# Dileu’r gosb o garchar am beidio â thalu treth gyngor

Adran gyflwyno: Llywodraeth Cymru

Dyddiad cau: 3 Medi 2018


**Cyngor ar Bopeth Cymru**

Liz Williams: liz.williams@citizensadvice.org.uk


Medi 2018


4th Floor, Trafalgar House | 5 Fitzalan Place | Cardiff | CF24 0ED

Tel: 03000 231 011 | Fax: 03000 231060

www.citizensadvice.org.uk

**Cyflwyniad**

Cyngor ar Bopeth yw'r darparwr amlgyfrwng mwyaf sy'n cynnig cyngor am ddim ar ddyledion. Dyled yw'r broblem fwyaf ond un sy'n poeni pobl a ddaw atom am gyngor, ac yn ystod 2017 a 2018, fe welsom 27,526 o bobl â 115,264 o broblemau dyledion. Ôl-ddyledion y dreth gyngor yw'r broblem ddyled fwyaf y mae ein cynghorwyr yn ymdrin â nhw, sef 11% o'r holl broblemau dyledion (5,962 o bobl â 13,096 o broblemau) yn ystod 2017-18. O'r rhain, roedd 4,072 yn ymwneud â gorfodi/beilïaid, ac o'r rheiny wedyn, roedd 291 o ymholiadau'n ymwneud â modd a charchar.

**A ydych yn cytuno y dylid dileu'r gosb o garchar am beidio â thalu treth gyngor?**

Mae Cyngor ar Bopeth yn llwyr gefnogi cynnig y Llywodraeth i wahardd carchariad fel cosb am beidio â thalu treth gyngor. Bydd anfon unigolyn i'r carchar am ddyled treth gyngor yn ei gwneud hi'n anoddach iddo dalu'r ddyled yn ôl yn ogystal â rheoli dyledion eraill, gan ei fod yn effeithio ar y defnydd o gredyd cost uchel, ac yn achosi cleientiaid i fethu taliadau rhent/morgais, yn ogystal â biliau nwy a thrydan.

Rydym yn cytuno â Llywodraeth Cymru nad yw dyled treth gyngor yn drosedd, a bod y gosb o garchar yn ymateb hen ffasiwn ac anghymesur i fater dyled sifil. Er hynny, mae pobl yn dal i gael eu hanfon i garchar am fethu talu. Gall fod â goblygiadau niweidiol, gan adael unigolion wedi'u hysgwyd i'r byw gan garchariad neu fygythiad o hynny. Mae'r astudiaeth 'I can't believe we still do that' yn dweud bod y defnydd o achosion traddodi ar gyfer dyled treth gyngor wedi cynyddu ers 2013, ac yn cael ei ddefnyddio'n aml yn erbyn y bobl hynny sy'n fwyaf agored i niwed.[1] Mae dyledion y cartref yn cael eu casglu'n fwy llym na dyledion credyd defnyddwyr, a'r dulliau'n rhai 'deliberately punitive'.[2] Fodd bynnag, nid yw'r mesurau hyn yn addas i broblem dyledion, oherwydd prin mai bai'r unigolyn neu wrthodiad bwriadol yw'r rhesymau dros fethu talu treth gyngor. O'r herwydd, mae tystiolaeth gadarn i ddangos bod carcharu rhywun am ddyled treth

---

1 https://www.i-m-a.org.uk/other-services/social-policy/ima-payplan-council-tax-imprisonment-campaign/ t.15.

2 Cyngor ar Bopeth, 'Hidden Debts: The growing problem of being behind on bills and in debt to the government', t.9.

gyngor yn gamwedd – gamweinyddiad cyfiawnder – oherwydd yn aml dyw'r rhai sy'n cael eu herlyn ddim yn gallu fforddio'r dreth.[3]

Mae cleientiaid fel arfer wedi cyrraedd pen eu tennyn erbyn iddyn nhw ddod atom ni am gyngor, yn aml yn dilyn gwŷs llys neu ymweliad gan swyddog gorfodi. Anaml y mae cleient yn gwrthod talu'r dreth gyngor, ac mae problemau ôl-ddyledion yn aml yn codi o'r ffaith bod rhywun ar incwm isel, mewn gwaith ansicr neu afreolaidd, yn derbyn budd-daliadau gwahanol neu fod ei amgylchiadau wedi newid, er enghraifft, ei fod wedi colli swydd, tor-perthynas neu ddiswyddiad. Oherwydd yr ansicrwydd ariannol a'r problemau dyledion parhaus, mae cleientiaid yn gorfod dewis rhwng talu treth gyngor neu dalu biliau hanfodol eraill, fel biliau dŵr, tanwydd a'r rhent. Gall peidio â thalu'r biliau hyn arwain at gael eu troi allan o'u cartref, neu golli cyflenwad nwy a thrydan.[4] Mae cleientiaid sydd mewn dyled treth gyngor yn fwy tebygol o fod yn ddi-waith, â phroblemau iechyd meddwl, ac yn byw mewn tai cymdeithasol.[5]

Mae carchar a'r defnydd o feilïaid yn gallu gwthio pobl sydd eisoes yn agored i niwed i sefyllfa ofidus lle maen nhw'n cael trafferth rheoli eu hiechyd meddwl. Cafodd bron i 8% o'n cleientiaid yng Nghymru â phroblemau iechyd meddwl broblem gydag ôl-ddyledion treth gyngor yn ystod 2017-2018. Efallai bod rhai cleientiaid yn anwybyddu neu ddim yn agor llythyrau'r dreth gyngor gan fod eu sefyllfa ariannol yn eu llethu. Mae sgiliau llythrennedd a chyllidebu ambell un yn wael, tra bod eraill yn methu blaenoriaethu dyledion gwahanol. O ganlyniad, mae'n bwysig bod y system casglu dyledion yn canolbwyntio mwy ar yr unigolyn, ac nad yw'n cael ei chynllunio o amgylch anghenion awdurdodau lleol neu'r lleiafrif sy'n gwrthod talu. Yn hytrach, dylai cymorth fod ar gael i rai sy'n methu talu a dylai awdurdodau lleol annog rhai sydd mewn dyled i ofyn am gyngor a chwilio am ateb i'w problem.

Mae un swyddfa Cyngor ar Bopeth yng Nghymru yn gweld cleientiaid yn wythnosol sydd â llythyrau gan awdurdod lleol yn bygwth gwrandawiad traddodi. Wrth archwilio'r mater, fodd bynnag, yn aml mae'n amlwg nad yw'r rheswm dros fethu talu yn bodloni

---

[3] https://www.i-m-a.org.uk/other-services/social-policy/ima-payplan-council-tax-imprisonment-campaign/ t.11.
[4] 'Hidden debts', t.18.
[5] 'Hidden debts', t.17.

meini prawf  esgeulustod  beius neu wrthodiad bwriadol. Yna, maen nhw’n cysylltu â’r cyngor i ddweud y byddai gwrandawiad ar fodd yn wastraff pellach ar y pwrs cyhoeddus ac nad yw cam o’r fath yn cael effaith gadarnhaol ar y dyledion sy’n ddyledus i’r awdurdod lleol.

Y brif broblem a welodd y swyddfa benodol hon o’r Cyngor ar Bopeth mewn cysylltiad ag ôl-ddyledion treth gyngor, oedd problemau’n deillio o gyfrifo’r dreth gyngor yn anghywir, yn enwedig gordaliadau, gyda’r adran adenillion yn gwrthod cymryd unrhyw gam gweithredu wrth i’r adran fudd-daliadau adolygu’r achos, er gwaethaf 14 wythnos o oedi wrth brosesu’r hawliadau am fudd-daliadau. Y broblem arall oedd bod rhai awdurdodau lleol yn defnyddio beilïaid i gasglu ôl-ddyledion y dreth gyngor, ac mae enghreifftiau o drosglwyddo cyfrif sy’n cael ei ddychwelyd gan un cwmni beilïaid at gwmni arall. Hefyd, gwelodd cynghorwyr fod awdurdodau lleol yn ddigon parod a chyflym (i lythyren y ddeddf) i wneud cais am Orchymyn Atebolrwydd, sy’n hynod rwystredig pan mae cymaint o oedi wrth brosesu budd-daliadau.

***Astudiaeth achos 1***

Mae Jane yn sengl ac yn byw gyda’i dau blentyn hŷn mewn tŷ tri llofft sy’n cael ei rentu gan yr awdurdod lleol. Mae’n gweithio’n rhan-amser fel glanhawraig ysgol ac yn ennill £330 y mis. Mae ei merch yn hawlio Credyd Cynhwysol a’i mab yn hawlio’r Lwfans Ceisio Gwaith, ond nid yw’r naill neu’r llall yn cyfrannu at gostau’r cartref. Mae Jane wedi cael gorchymyn troi allan am rent heb ei dalu. Mae Jane yn nodi mai dim ond gyda'r awdurdod lleol mae ganddi ddyledion, sef y rhent a’r dreth gyngor.  Nid oedd hi’n gwbl sicr faint oedd y symiau, ac roedd yn ansicr ynglŷn â’i sefyllfa o ran gostyngiadau’r dreth gyngor a budd-dal tai. Cysylltodd ei swyddfa leol Cyngor ar Bopeth ag adran rhenti’r awdurdod lleol a gwelwyd bod gan Jane ôl-ddyledion treth gyngor o £1848.22 ar hyn o bryd. Nid yw’r awdurdod lleol yn gallu stopio’r gorchymyn troi allan ar hyn o bryd ac mae angen i Jane apelio i’r llysoedd. Ar ben hynny, mae gan Jane ddyledion o £339.61 ers 2016/17 ac 17/18 a basiwyd i’r beilïaid yr wythnos hon. Mae gan Jane ddyled o £669.91 o’r blynyddoedd blaenorol hefyd gyda gorchymyn atal cyflog o £11 y mis. Mae ganddi ddyled bellach o £828.77 ac mae **achos traddodi i garchar** wedi’i gychwyn. Cysylltodd Cyngor ar Bopeth â Shelter Cymru i gael sgwrs fanwl am sefyllfa Jane. Bydd gan Jane apwyntiad pellach â’i swyddfa leol Cyngor ar Bopeth i lenwi ffurflen N244 i atal y warant.

Mae Cyngor ar Bopeth wedi gweithio gyda Chymdeithas Llywodraeth Leol Cymru i ddatblygu canllawiau ar gasglu dyledion y dreth gyngor er mwyn sicrhau bod y system yn deg ac yn effeithiol yng Nghymru.

**Do you have any other comments regarding this consultation?**

Mae rhoi'r gorau i garcharu pobl am beidio â thalu treth gyngor yn hanfodol er mwyn gwella arferion casglu dyledion llywodraeth leol yn ehangach, ac mae'n cynghorwyr ni wedi dweud mai'r *gorddefnydd* o asiantau gorfodi yw un o'r problemau mwyaf sy'n gysylltiedig â chasglu ôl-ddyledion treth gyngor yma yng Nghymru.[6]

Yn ôl astudiaeth 'Stop the Knock', mae gan wyth o'r 21 o awdurdodau lleol Cymru bolisi ffurfiol ar waith sy'n cynnwys trigolion mewn amgylchiadau bregus neu sy'n agored i niwed (38%).[7] Fodd bynnag, mae'n gwaith ymchwil ni'n dangos bod ein cynghorwyr ar y cyfan yn feirniadol o agwedd asiantau gorfodi at bobl fregus, gan eu bod nhw'n llai tebygol o dderbyn tystiolaeth lafar gan gynghorwyr bod cleient mewn sefyllfa fregus, a phrin yn ystyried amgylchiadau'r cleient neu'n mynd ati i nodi achos o fod yn/agored i niwed.[8]

Mae tystiolaeth gan swyddfeydd lleol Cyngor ar Bopeth yn dangos bod asiantau gorfodi yn aml yn gallu ymddwyn yn fygythiol, gan achosi rhagor o straen a phoen meddwl i gleientiaid. Rydym wedi gofyn i Lywodraeth Cymru a Chymdeithas Llywodraeth Leol Cymru sicrhau bod gan bob awdurdod lleol ddangosyddion cytûn o ddyledwyr mewn sefyllfaoedd agored i niwed, a'u bod nhw'n ymwybodol o'r camau sydd angen eu cymryd yn yr amgylchiadau hyn.[9] Mae hyn yn cyd-fynd ag argymhelliad arall hefyd, lle mae dyled yn cael ei chymryd oddi ar asiantau gorfodi ar unwaith os nodir achos o fod yn agored i niwed, er mwyn defnyddio ffordd fwy addas o gasglu dyledion.[10] Hefyd, dylai Llywodraeth Cymru a CLlLC sicrhau bod pob asiant gorfodi a gyflogir gan wasanaethau

[6] Citizens Advice, 'Fairness for all: Improving council tax debt collection in Wales', t.7.
7 Money Advice Trust, 'Stop the Knock: Mapping local authority debt collection practices in England and Wales', t. 16.
8 'Fairness for all', t.35.
9 'Fairness for all', t.10.
10 'Fairness for all', t.11.

casglu dyledion allanol wedi cael hyfforddiant penodol ar ddelio ag achosion o fod yn agored i niwed.[11]

Mae Cyngor ar Bopeth yn credu bod angen annog pobl i ddefnyddio dulliau mwy personol a chliriach o gyfathrebu â dyledwyr er mwyn eu hannog i gymryd camau a gofyn am gyngor ynghynt, ac mae hyn yn cynnwys cyfeirio dyledwyr at asiantau cynghori allanol fel Cyngor ar Bopeth.

Tra bod asiantau gorfodi yn bygwth cleientiaid bregus wyneb yn wyneb yn rheolaidd, mae'r sector cynghori am ddim yn poeni nad yw cwynion am asiantau yn cael eu hymchwilio'n ddigon trylwyr. Mae Cyngor ar Bopeth yn gofyn i awdurdodau lleol sefydlu system i ymchwilio i gwynion am ymddygiad asiantau gorfodi, a bod camau priodol yn cael eu cymryd yn erbyn drwgweithredwyr cyson.[12] Dylid cael rheoleiddiwr beilïaid annibynnol fel bod pobl yn gwybod lle i droi os ydyn nhw'n cael eu trin yn annheg ac er mwyn cael gwared ar arferion gwael ac ymddygiad amhriodol.[13]

Yn ogystal ag awdurdodau lleol sy'n diystyru sefyllfaoedd agored i niwed, mae ein hymchwil ni'n dangos nad oedd fforddiadwyedd cleientiaid yn cael ei ystyried fawr ddim a bod pobl yn aml yn teimlo nad oedd ganddynt fawr o ddewis o ran sut i ad-dalu'r dreth gyngor, ac mai ychydig o ystyriaeth a roddwyd i'w gallu i fforddio talu'r ddyled.[14] Roedd yr ymchwil hefyd yn dangos, hyd yn oed ar ôl i rai cleientiaid ddweud wrth eu hawdurdodau lleol nad oedden nhw'n gallu talu'r ad-daliad misol disgwyliedig, bod y cyngor yn gwrthod rhoi gostyngiad ac nad oedd lle yn aml i drafod ad-daliadau wedyn.[15]

Mae llawer o'n cleientiaid naill ai'n methu blaenoriaethu eu dyledion neu'n teimlo eu bod wedi'u gorlethu gan eu sefyllfaoedd ariannol. Fodd bynnag, mae'n amlwg mai ychydig iawn o gymorth a gynigir i lawer o bobl gan eu hawdurdod lleol ynglŷn â'u dyled treth gyngor, a bod angen rhoi rhagor o ystyriaeth i'w hamgylchiadau cyn cychwyn camau gorfodi. Trwy ddefnyddio'r wybodaeth sydd eisoes ar gael am ddyledwyr, fel gwybodaeth am fudd-daliadau (gostyngiad treth gyngor, budd-dal tai ac ati), gall awdurdodau lleol ddefnyddio'r dull mwyaf priodol o gasglu dyledion a sicrhau bod

11 'Fairness for all', t.11.

12 'Fairness for all', t.12.

13 https://wearecitizensadvice.org.uk/its-time-for-an-independent-bailiff-regulator-e44b5f486dce

14 'Fairness for all', t.36.

15 'Fairness for all', t.37.

asiantau gorfodi ond yn cael eu defnyddio fel yr ateb olaf.[16] Os oes cymorth ar gael, fel Cynllun Gostyngiadau'r Dreth Gyngor a gostyngiadau eraill, mae angen eu hyrwyddo'n fwy amlwg fel bod aelwydydd cymwys yn gwybod bod hawl ganddynt i gael y cymorth ychwanegol.

Mae hefyd yn bwysig bod awdurdodau lleol yn defnyddio'r dull gorfodi mwyaf effeithiol posib bob tro. Mae pryderon am lefelau gorfodi, a pha mor briodol ydynt, pan fo cleientiaid yn agored i niwed neu mewn dyled oherwydd swydd afreolaidd ar gyflog isel neu newid mewn budd-daliadau. Mae ymchwil gan Cyngor ar Bopeth yn dangos bod dros hanner y cynghorwyr yn credu bod dyledion treth gyngor yn cael eu trosglwyddo'n rhy sydyn i asiantau gorfodi, cyn caniatáu digon o amser i ystyried dulliau eraill o ad-dalu.[17] Fodd bynnag, mae'n bwysig cytuno ar gynllun ad-dalu fforddiadwy ac nad yw'r swm sy'n cael ei ddidynnu o fudd-daliadau neu orchmynion atal cyflog yn arwain at ragor o galedi i ddyledwyr.

Gall awdurdodau lleol Cymru ddefnyddio sawl dull o gasglu dyledion treth gyngor. Er mwyn sicrhau bod y dull mwyaf priodol yn cael ei ddefnyddio ar gyfer unigolyn, mae'n bwysig bod awdurdod lleol yn ymwybodol o amgylchiadau'r unigolyn hwnnw. Dylid cael rhagor o hyblygrwydd gydag opsiynau ad-dalu, fel aildrefnu dyledion os bydd rhywun yn methu taliadau ac ymestyn yr amserlen y tu hwnt i'r flwyddyn ariannol.

---

16 'Fairness for all', t.11.

17 'Fairness for all', t.28.

*Astudiaeth achos 2*

Mae Lisa yn sengl a heb gartref sefydlog ar hyn o bryd. Dywedodd ei bod hi'n aros ar soffa ffrindiau a theulu ar hyn o bryd, ond yn gobeithio cael cartref erbyn diwedd y mis. Ffoniodd Lisa ei swyddfa leol Cyngor ar Bopeth yn gynharach heddiw ar ôl i'w mam ffonio i ddweud bod beili wedi galw heibio i holi am ddyled dreth gyngor yn enw Lisa. Dywedodd Lisa ei bod hi wedi cysylltu â'r beili, a ddywedodd wrthi fod y mater yn ymwneud ag ôl-ddyledion treth gyngor i gyngor gwahanol a bod arni hi ychydig dros £700. Nid oedd Lisa yn dadlau atebolrwydd y ddyled, dim ond y ffaith na allai ei dalu mewn un swm. Er iddi geisio trafod gyda'r beili a gofyn iddo beidio â galw heibio cartref ei rhieni, dywedodd yntau taw dyma'r cyfeiriad a gafodd at ddibenion gorfodi - ac y byddai'n parhau i ddefnyddio'r cyfeiriad hwn oni bai ei bod hi'n darparu cyfeiriad arall iddo. Dywedodd Lisa na allai roi cyfeiriad arall gan nad oes ganddi gartref sefydlog ar hyn o bryd, ac nad yw hi'n gallu talu'r swm gofynnol ar unwaith. Dywedodd y beili y byddai'n mynd â nwyddau o gartref ei rhieni pe na bai'n dod i ryw fath o drefniant ariannol.

Hoffai Lisa wybod pa hawliau sydd gan ei rhieni i'w gadw draw, a sut allwn ni ei helpu i drafod trefniant talu addas. Fe wnaethom ni esbonio nad oes gan feilïaid unrhyw hawl mynediad ar gyfer ôl-ddyledion treth gyngor felly does dim rhaid i'w rhieni ei adael i mewn i'w cartref cyn belled nad yw wedi cael mynediad eisoes. Roedd hyn yn gryn ryddhad i Lisa. Bydd Lisa yn mynychu apwyntiad arall gyda'i Chyngor ar Bopeth lleol a fydd yn ei helpu i drafod trefniant talu addas.

*Astudiaeth achos 3*

Mae gan Mrs K ddyledion treth gyngor. Mae wedi talu £1500 ac mae disgwyl iddi dalu £270 y mis, ond nid yw'n gallu parhau â'r swm hwn. Mae Mrs K yn sengl, ac mae ganddi ferch sy'n gweithio ac felly ddim yn ddibynnol arni. Mae ganddi broblemau iechyd difrifol. Mae Mrs K yn derbyn Lwfans Cyflogaeth a Chymorth o £125.65 yr wythnos.

Un bore, daeth beiliïaid draw a chlampio'r car y tu allan i'w chartref. Car ei mam oedd e – dyw enw'r fam ddim ar y llyfr log, ond dywedodd y beiliïaid mai hi oedd y perchennog gan fod yswiriant y car yn enw'r cleient.

Roedd Mrs K yn gallu talu rhywfaint, ond nid y swm yr oedd yr awdurdod lleol yn ei hawlio. Tynnwyd y clamp maes o law gydag ymyrraeth yr heddlu. Mae ei phroblemau iechyd wedi gwaethygu yn sgil y camau gorfodi. Roedd Cyngor ar Bopeth yn gallu helpu Mrs K i drefnu taliadau mwy fforddiadwy er mwyn ad-dalu'r arian dan sylw.